# UNDEB CYNGHRAIR Y CENHEDLOEDD
## Y Cyngor Cenedlaethol Cymreig.

# Cyflafareddiad—Diogelwch—Diarfogiad.

## Y TRI CHAM TUAG AT HEDDWCH.

Yn y darlun fe welwch UN enghraifft LEOL o erchylltra'r rhyfel diweddaf. *A garech chwi i hyn ddigwydd eto ?* Eithr gwaeth na hyn a fydd effeithiau a chanlyniadau'r rhyfel nesaf.

Cynghrair y Cenhedloedd yw'r unig sefydliad ymarferol er osgoi rhyfeloedd. Peirianwaith byd-lydan ydyw yn cyffwrdd â phob agwedd o fywyd yn boliticaidd, yn gymdeithasol, ac yn economaidd. A'i brif bwrpas yw SICRHAU HEDDWCH. Rhaid ymgyrraedd at y nôd bob yn gam. Saif y Cynghrair dros Ddiarfogiad Cydwladol, a gosod cyfiawnder deddf yn lle grym arfau.

I. Y CAM CYNTAF yw dylanwadu ar y gwahanol lywodraethau i dderbyn yr egwyddor o Gyflafareddiad, ac yn enwedig i arwyddo'r Erthygl Ddewis, trwy yr hon yr addewir gosod pob achos *cyfreithiol* gerbron y Llys Barn Cydwladol. Y mae hanner y gwledydd a berthyn i'r Cynghrair wedi gwneuthur hyn, ond nid yw Prydain Fawr yn eu mysg. A wnewch chwi ei helpu i gymryd y cam cyntaf ?

II. Y CAM NESAF yw creu awyrgylch o ddiogelwch trwy gytuno ar gyfamodau o gyflafareddiad rhwng gwlad a gwlad. Cytunodd Prydain Fawr â rhai gwledydd eisoes. Onid yw'n bryd iddi ddatgan ei pharodrwydd i wneuthur cyfamodau ag unrhyw genedl wareiddiedig ?

III. Y TRYDYDD CAM yw Diarfogiad Cydwladol. Y mae'r gwledydd a orchfygwyd yn y Rhyfel Mawr yn ddiarfog eisoes, ac os ydynt i barhau felly rhaid i wledydd eraill ddiarfogi yn ôl yr addewid a roddwyd i'r Almaen pan arwyddwyd y Cyfamodau Heddwch yn 1919. Beth all Prydain Fawr ei wneuthur ? Gall roddi cymorth a chefnogaeth cywir i'r Comisiwn Diarfogiad yn ei waith o baratoi at y Gynhadledd Diarfogi. Helpwch hi i gymryd y trydydd cam.

---

Bodola UNDEB CYNGHRAIR Y CENHEDLOEDD i uno lleisiau'r werin o blaid y polisi uchod ac i roddi mynegiant di-gamsyniol i'r farn gyhoeddus ar y mater.

Ebe'r Arglwydd Cecil ar y di-wifr :—

*" Llawer a ganmol heddwch, ond ychydig a'i gwerthfawroga hi."*

Dangoswch eich bod yn ei gwerthfawrogi drwy ymuno â'r Undeb.

---

*Gellir cael manylion ynghylch gwaith Cynghrair y Cenhedloedd ac Undeb Cynghrair y Cenhedloedd gan Ysgrifennydd Undeb Cymreig Cynghrair y Cenhedloedd,* 10, *Museum Place, Caerdydd.*

# Sinking of the German Battleship *Blücher*



A

MODERN

BATTLESHIP

COSTS

£7,000,000

AND

IS

MANNED

BY

1250

OFFICERS

AND

MEN

(*Daily Mail Copyright*)